HANES

# Y BACHGEN DU.



BALA:
ARGRAPHEDIG GAN R. SAUNDERSON.

Pris Dwy Geiniog.

# HANES

# Y BACHGEN DU.



GAN Y
PARCH. LEGH RICHMOND, A. C.
Awdwr "MERCH Y LLAETHWR," a "JANE FACH."

A GYMREIGIWYD
GAN Y PARCH. RICHARD RICHARDS,
PERIGLOR CAERWYS.

Y PEDWERYDD ARGRAPHIAD.



BALA:
ARGRAPHEDIG GAN R. SAUNDERSON.
1849.



PRIS DWY GEINIOG.

# HANES Y BACHGEN DU.

## RHAN I.

PAN yr oeddwn yn byw ac yn gweinidogaethu mewn plwyf ar làn y môr, galwodd arnaf ryw ddiwrnod wr bonheddig, yr hwn oedd swyddog yn y môr-fyddin, ac a ddywedodd wrthyf ei fod wedi cymmeryd lletty iddo ef a'i wraig, a'i blant, yn y plwyf: a bod ganddo un o fechgyn duon Affrica yn was, yr hwn a fuasai yn ei wasanaeth dair blynedd. "Bachgen da yw'r llangc hefyd," eb efe, "ac y mae arno eisiau mawr iawn cael ei fedyddio: addewais wrtho ef y siaradwn â chwi ynghylch y peth, a gofyn i chwi wneuthur hyny, os nad oes genych ryw wrthwynebrwydd i hyny."

"A ŵyr efe ryw beth am egwyddorion y grefydd Grist'nogol?"

"O, gŵyr, yn siwr," ebe'r Cadben, "canys y mae yn siarad llawer iawn yn y gegin am hyny, ac y mae yn cael ei watwar am ei boen; etto y mae yn cymmeryd y cwbl yn bur ddioddefgar."

"A ydyw efe yn ymddwyn yn dda fel eich gwas chwi?"

"Ydyw; y mae mor onest a hynaws bachgen a fu erioed ar fwrdd llong, neu mewn tŷ."

"A oedd efe felly bob amser?"

"Nac oedd," ebe'r Cadben; "canys pan y prynais ef yr oedd yn fynych yn bur afreolus, ac

yn hynod dwyllodrus; ond dros y ddwy flynedd ddiweddaf mae wedi ymddwyn fel dyn newydd."

"Wel, Syr, fe fydd yn bur dda genyf ei weled ef, ac fe allai y bydd raid i mi ei holi a'i hyfforddi ef ym mhrif byngciau Crist'nogrwydd; ac wrth hyny gallaf benderfynu, pa un a ydyw yn iawn ei dderbyn ef i'r sacrament o fedydd, ai nid yw. A fedr efe ddarllen?"

"Medr," ebe ei feistr; "ac yn wir fe gymmerodd lawer o boen i ddysgu—ac y mae fy morwyn yn dywedyd wrthyf y darllenai efe bennod yn y Bibl yn o dda. Y mae'n medru siarad Saes'neg yn well na llawer o'i gydwladwyr, ond chwi a'i cewch ef weithiau yn o anhylaw yn ei eiriau. Pa bryd y bydd hi yn gyfleus i chwi iddo ddyfod yma attoch?"

"Y fory, Syr, yn y prydnawn, os gwelwch yn dda."

"Wel, fe gaiff ddyfod y fory, oddeutu pedwar ar gloch y prydnawn."

Ar hyn ymadawodd y Cadben. Drannoeth, ar yr amser gosodedig, wele'r *Negro* yn dyfod. Yr oedd yr olwg arno yn ieuangc; a chanddo wynebpryd hawddgar a synhwyrol. Perais iddo eistedd i lawr, a dywedais wrtho, "Y mae eich Meistr wedi dywedyd wrthyf, bod arnoch eisiau ymddiddan â mi ynghylch Bedydd Crist'nogol."

"Gwir, Syr, mi dymuno yn mawr bod mi Cristion."

"Pa'm yr y'ch yn dymuno hyn?"

"Oblegid mi gwybod bod Cristion pan marw yn myn'd i nefoedd."

"Er's pa bryd yr ydych yn dymuno hyn?"

"Er's pan mi clywed gweinidog da yn pregethu yn America; er's dwy blynedd eleni."

"Yn mha le y ganwyd chwi?"

"Yn Affrica. Mi bachgen par bach, pan dyn gwyn myn'd â mi ffwrdd yn caethwas."

"Pa sut fu hyny?"

"Mi myn'd o cartre' un diwrnod, a gadael tad a mam, i hel cregin ar min y môr; a mi yn plygu lawr i hel cregyn, pobl gwynion dywad o cwch, a cipio mi ffwrdd. Mi byth gweled tad a mam wedi'n."

"A pheth a fu gwedi hyn?"

"Mi cael rhoi yn llong, a mi cael dwyn i Jamaica, a mi cael gwerthu i Meistr yno, a fo cadw mi yn tŷ yn gwas fo tros blynyddau, hyd pan Cadben W——, yr hwn siarad â chwi doe prynu mi oddeutu tri blynedd yn ol, yn gwas iddo yn llong. A fo Meistr da iawn; fe gwneud mi yn rhydd, a mi byw byth gyda fo wedi'n."

"A pha beth yr oeddych yn ei feddwl am eich enaid yr holl amser cyn i chwi fyn'd i'r America?"

"Mi meddwl dim am m' enaid cyn hyny."

"Yn awr dywedwch wrthyf, pa sut y bu hi yn yr America? Pa sut y daethoch chwi yno?"

"Mi myn'd yno gyda Meistr yn llong, a fo aros yno mis, a mi amser hwnw clywed gweinidog da."

"A pheth a ddywedodd y gweinidog da?"

"Fo d'weyd, Syr, mi pechadur mawr."

"Beth, a ddywedodd efe wrthych chwi yn bennodol felly?"

"Mi meddwl hyny; er bod llawer iawn gwrando fo, etto fo d'weyd wrthynt hwy gyd am fi."

"Beth a ddywedodd efe?"

"Fo d'weyd, Syr, am bob peth yn calon fi."

"Pa bethau?"

"Pechod fi, anwybodaeth fi; mi gwybod dim byd, mi credu dim byd. Gweinidog da peri i mi gweled, nad fi meddwl dim da, ac nad fi gwneud dim da."

"A pha beth yn ychwaneg a ddywedodd efe?"

"Fo gweithiau yn edrych yn llygaid fi, a dywedyd, Iesu Crist dywad i marw dros pechaduriaid; ie, tros pechaduriaid duon, cystal a pechaduriaid gwynion. Mi meddwl hyn pur da, pur da yn wir, gwneuthur hyn dros pechaduriaid drwg."

"Ond beth a barodd i chwi feddwl mai wrthych chwi yr oedd hyn yn cael ei lefaru?"

"Wel, oblegid mi gwybod dim math pechadur drwg a mi yn yr holl le. Rhaid gweinidog da gwybod mi yno."

"A pha beth oeddych yn ei feddwl am danoch eich hun pan yr oedd yn pregethu am Iesu Grist."

"Syr, mi mawr ddychrynu, pan fo d'weyd, pechaduriaid drwg rhaid myn'd i tân uffern; oblegid mi teimlo mi drwg pechadur—a hyn peri i mi wylo. A fo d'weyd lawer am cariad Crist i bechaduriaid—a hyny peri mi wylo mwy. A mi meddwl rhaid mi caru Iesu Crist, a mi dim gwybod ffordd—hyny peri mi wylo ychwaneg."

"A glywsoch chwi fwy nag un bregeth yn yr America?"

"Do, Syr; Meistr rhoi cenad i mi myned tri gwaith—a mi pob tro eisieu caru Iesu mwy, a gwneud peth Iesu Crist d'weyd. Ond calon mi weithiau fel careg."

"A glywsoch chwi neb yn pregethu wedi hyny."

"Na ddo, Syr, tan mi clywed pregeth yn yr eglwys hon ddydd Sul diweddaf—ac yna mi dymuno cael bedyddio yn enw Iesu; oblegid mi dim cael ffrindiau Cristion i bedyddio mi pan mi bachgen bach."

"Pa fodd y bu arnoch chwi o hyd er pan y glywsoch y pregethau hyny yn yr America? A ddywedasoch chwi wrth neb pa fodd yr oedd arnoch."

"Na, mi siarad wrth neb amser hyny, ond wrth Dduw. Gweinidog da d'weyd Duw gwrando gwaedd pobl tlawd; felly mi gwaeddi at Dduw, a fo gwrando mi—a mi meddwl mynych mynych am Iesu Crist, ac eisiau bod yn tebyg iddo."

"A fedrwch chwi ddarllen?"

"Ychydig."

"Pwy a'ch dysgodd?"

"Duw, fo dysgu mi darllen."

"Beth yr ydych yn ei feddwl wrth ddywedyd felly?"

"Duw rhoddi i mi chwant darllen, a hyny gwneud darllen hawdd. Meistr rhoddi mi Bibl, ac un morwr dysgu mi llythyrenau; ac felly mi dysgu darllen fy hun trwy gymhorth Duw."

"Ac am ba beth yr ydych yn darllen yn y Bibl?"

"O! mi darllen cwbl am Iesu Crist, pa fodd fo caru pechaduriaid, a pa sut dynion drwg lladd fo, a fo marw, a chodi o'r bedd gwedi'n, a hyn i gyd dros y Negro tlawd. Yn wir, y meddwl i Grist

felly caru y Negro tlawd, yn peri i mi wylo weithiau."

"Beth mae eich cymdeithion yn ei ddywedyd am eich darllen, eich gweddïo, a'ch ymroddiad i bethau Duw?"

"Rhai drwg dynion, dim caru Iesu Crist, galw fi dyn disynwyr, ci du, a rhagrithiwr du. Hyn weithiau yn gwneyd mi dig; yna mi cofio na dylai Cristion digio; canys galwyd Iesu Crist wrth lawer enw hyll, cas, etto fe llonydd ac addfwyn fel oen; ac felly mi cofio am Iesu Crist, ac minnau dywedyd dim yn ol."

Cefais lawer o hyfrydwch yn null plentynaidd, ac yn ymddangosiad didwyll y bachgen du hwn; ond etto yr oedd arnaf eisieu gwybod ei feddwl ar rai brif byngciau: a daeth y geiriau hyn o eiddo St. Paul i fy meddwl, "yn awr y mae yn aros ffydd, gobaith, cariad," &c. a gofynais iddo,

"Dywedwch i mi beth yw ffydd? Beth yw eich ffydd chwi? A pha bethau yr ydych yn eu credu am Iesu Grist, ac am eich enaid eich hun?"

"Mi credu (eb efe) i Iesu Crist dywad i'r byd i cadw pechaduriaid; ac er bod mi yn penaf o pechaduriaid, etto Iesu Crist cadw mi, er bod mi bachgen du tlawd."

"Pa beth yw eich gobaith? Pa beth yw eich gobaith, yn gystal am bethau y byd hwn a phethau y byd arall?"

"Mi gobeithio Crist Iesu cymmeryd gofal fi, a cadw fi tra fi byw rhag pechod a phob niwed: a fi disgwyl pan fi dywad i marw, cael myn'd i byw gyda Crist byth, a dim marw gwedi'n."

"Wel, pa beth yr ydych yn ei feddwl am gar-

iad Cristionogol? Hyn yr wyf yn ei feddwl, Pwy a pha beth yr ydych yn ei garu fwyaf?"

"Mi caru Duw Tad, oblegid fo mor da danfon ei Fab; fi caru Iesu Crist, oblegid fo caru fi; mi caru pob dyn, du dyn a gwyn dyn hefyd, oblegid Duw gwneuthur pawb, du dyn a gwyn dyn; mi caru pobl da, oblegid Iesu Crist caru nhw, a nhw caru Crist."

Yma y cewch yr ymddiddan cyntaf a fu rhyngof a'r bachgen du hwn. Llawenychais wrth feddwl am yr amser y cawn ei dderbyn i fewn i'r eglwys Gristionogol, yn ol ei ddymuniad. Ond yr oedd arnaf eisieu holi yn fanylach am ei ymddygiad; am hyny addewais yr awn i dŷ ei feistr un o'r dyddiau canlynol, ac y cawn siarad ychwaneg âg ef am y pethau hyn. Yna ymadawodd.

Ar ol ei ymadawiad, meddyliais, Bod Duw yn ddiau wedi prynu trwy waed ei Fab eneidiau allan o bob llwyth, iaith, a chenedl; ac er bod llawer cenedl mewn caethiwed o ran eu cyrph, etto, bendigedig fyddo Duw! y mae efe, trwy ei ras, yn galw amryw o honynt i fwynhau rhyddid gogoneddus plant Duw; ac felly maent yn cael eu rhyddhau o'i gaethiwed ef, yr hwn sydd yn dal llawer yn gaeth wrth ei ewyllys. Melus yw yr addewid, "y bydd i Ethiopia estyn ei dwylaw yn brysur at Dduw." Am hyn, "Caned teyrnasoedd y byd i'r Arglwydd."

## RHAN II.

Yn ol ychydig ddyddiau, aethum i ymweled ac ymddiddan â'r *Bachgen Du*, yn nhŷ ei feistr. Yr oedd lletty ei feistr oddeutu pedair milldir oddi wrthyf; ac yr oedd y ffordd a gymmerais yn myned dros gefnen go uchel; ac oddiar y gefnen hon y gwelid darn mawr o fôr a thir. Yr oedd yr ochr agosaf i'r môr yn serth a chreiglyd ofnadwy. Pan ddaethum i ael y bryn yma, edrychais i waered, a gwelais ddyn yn eistedd ar un o'r tapiau, â llyfr yn ei law. Yr oedd y lle yr oedd yn eistedd oddeutu dau cant o latheni yn union oddi tanaf; etto, er hyn, canfyddais yn fuan wrth ei wisg a'i liw, mai fy nisgybl du ydoedd: ac nid oeddwn yn ammeu nad y Bibl oedd y llyfr oedd yn ei law ef. Llawenychais wrth feddwl cyfarfod âg ef yn y fath le cyfleus i ymddiddan. Aethum i waered o ael i ael, fel un yn disgyn ar hyd grisiau, hyd oni ddaethum ato ef. Yr oedd mor astud yn darllen, fel na chanfyddodd fi, nes i'm ddyfod yn bur agos ato ef. Yna gofynais,

"William, ai chwi sydd yna?"

"Ië, Massa, fi pur llawen gweled chwi. Sut Massa dyfod i lle hwn? fi meddwl neb yma ond Duw a fi."

"Yr oeddwn yn meddwl myned i dŷ eich meistr, i'ch gweled chwi; ac mi ddaethum y ffordd hon er mwyn gweled y wlad o'm hamgylch. Mynych y byddaf yn cyrchu yma ar dywydd têg, i weled

y môr a'r llongau. Ai eich Bibl ydyw hwnyna William?"

"Ië, Syr, hwn Bibl da fi."

"Y mae yn dda genyf eich gweled wrth waith mor dda. Y mae hyn yn argoel dda, William."

"Ydyw, Massa, yn argoel bod Duw yn da i fi; ond fi byth da i Duw."

"Pa sut felly?"

"Wel, fi byth diolch fo digon; fi byth gweddïo fo digon; fi byth dim cofio digon, pwy sy rhoddi pob daioni hyn i fi. Massa, fi ofni bod calon fi hynod drwg. Mi dymuno bod yn debyg i chwi."

"Yn debyg i mi, William? Yr y'ch yn debyg i mi bechadur gwael, ag fydd raid iddo, yn gystal a chwithau, farw yn ei bechodau, oni wna Duw, o'i anfeidrol drugaredd a'i ras, ei gipio allan fel pentewyn o'r tân, a'i wneuthur yn esampl o'i ragorol gariad a'i drugaredd. Nid oes wahaniaeth rhyngom; yr ydym ein dau wedi dyfod yn ol am ogoniant Duw: pawb a bechasant."

"Na, Massa, fi dim tebyg chwi, fi meddwl neb tebyg fi; neb teimlo fath calon a fi."

"William, nid yw eich teimladau chwi ar hyn, yr wyf yn meddwl, ond cyffelyb i deimladau pob enaid argyhoeddedig, yr hwn sydd yn gweled mawr ddrwg pechod, a'r anfeidrol werth a dalodd Iesu Grist er rhyddhad pechadur. Chwi a ellwch ddywedyd yn ngeiriau yr hymn,

O bob pechadur yn y byd,
Myfi yw'r penaf un;
Ond trosof fi, ar bren y groes,
Yr Iesu roes ei hun.

"O! galla, Syr, fi credu Iesu marw dros Negro

tlawd. Beth dwad o Negródrwg, tlawd, pe Iesu Crist dim marw drosto. Ond fo marw dros penaf pechaduriaid, a hyn gwneyd calon fi llawen weithiau."

"Pa le o'r Bibl oeddech yn ei ddarllen, William?"

"Fi darllen pa sut dyn ar y croes siarad â Crist, a pa sut Crist siarad â fo. Yn wir, gweddi dyn hwnw gwneyd tro fi pur dda; 'Arglwydd, cofia fi.' Arglwydd, cofia Negro tlawd a phechadurus. Dyma gweddi fi pob boreu, a gweithiau nos hefyd; pan fi dim gallu meddwl a cael llawer geiriau i dweyd, fi dweyd hyn drachefn, Arglwydd, cofia Negro tlawd pechadurus."

"Yn sicr i chwi, William, y mae Duw yn gwrando y weddi yna. Efe a wrandawodd ac a dderbyniodd y lleidr ar y groes, ac ni wrthyd ef chwithau: ni fwria neb mewn un modd allan ag a ddaw ato."

"Na wna, Syr, fi credu hyny: ond y mae cymmaint pechod yn fy calon i, fel fi ofni a galaru. Massa, chwi gweled y llygaid meheryn* yma, pa sut nhw glynu wrth y creigiau? Yn pur tebyg i hyn, pechod glynu wrth calon fi."

"Fe allai hyny, William; ond cymmerwch olwg arall ar y gyffelybiaeth: ydych chwi yn glynu trwy ffydd wrth farwolaeth a chyfiawnder Iesu Grist, fel y mae y cregin yna yn glynu wrth y graig; yna ni all na môr na thymhestl eich gwahanu oddiwrth ei gariad ef."

---

* Math o gregin-bysgod ag sydd yn glynu yn dra chadarn wrth greigiau ar làn y môr.

"Dyna peth fi eisiau."

"Wel, dywedwch wrthyf, William, onid yw y pechod am yr hwn y soniasoch, yn faich i chwi? Nid ydych yn ei garu ef; fe fyddai yn dda genych gael nerth i'w orchfygu, a bod yn rhydd oddi wrtho, oni fyddai?"

"O! byddai, fi rhoddi byd hwn, pe fo yn eiddo fi, am bod yn rhydd oddi wrth pechod."

"Deuwch, ynte, frawd, deuwch a chroesaw at Iesu Grist; mae ei waed ef yn glanhau oddiwrth bob pechod. Efe a roddodd ei hun yn Iawn dros bechaduriaid. Diau efe a gymmerth ein gwendid ni, ac a ddug ein doluriau: efe a archollwyd am ein camweddau ni, ac efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni. Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd. Deuwch, ie, dewch yn rhwydd at Iesu Grist, Iachawdwr pechaduriaid."

"Ië, Massa," eb efe, "dan wylo, "fi 'wyllysio dwad ond fi dwad pur araf, pur araf, Massa: fi chwant rhedeg, fi eisiau 'hedeg. Iesu pur da i Negro tlawd, danfon chwi i dywedyd fi'r holl bethau hyn."

"Nid dyma'r tro cyntaf i chwi glywed y gwirioneddau hyn?"

"Nage, Syr, bu nhw cysur f'enaid llawer tro, er's pan fi clywed gweinidog da yn yr America, fel fi dweyd wythnos o blaen i chwi."

"Wel, William, yr wyf yn gobeithio, gan i'r Arglwydd weled yn dda, yn ei drugaredd, i agoryd llygaid eich meddwl chwi, a rhoddi i chwi y fath olygiadau ar ei ddaioni tu ag atoch chwi, yn

rhoddi ei Fab i farw drosoch, eich bod chwithau yn ymdrechu i gadw ei orchymynion ef, ac yn ymegnïo i ymddwyn yn weddus tu ag at eich Meistr a'ch Meistres, a'ch cyd-weision. Yr hwn sydd yn Gristion yn dufewnol, sydd hefyd yn Gristion allanol. Yr hwn sydd yn gwir ac yn achubol gredu yn Nghrist, a ddengys ei ffydd trwy ei weithredoedd, fel y dywed yr Apostol. Onid fel hyn y mae, onidê, William?"

"Ië, Syr, fi eisiau gwneyd felly; fi chwant bod ffyddlon. Fi galaru llawer bod fi gwas mor drwg, cyn pethau da Iesu Crist dwad i calon fi. Fi eisiau gwneuthur da i Massa, pan fo gweled fi, a phan fo dim gweled fi; oblegid fi gwybod Duw gweled fi bob amser. Fi gwybod hefyd, os fi pechu yn erbyn Massa, fi pechu yn erbyn Duw, a Duw fod pur dig wrth fi. Hefyd, pa sut gall fi caru Crist, os fi dim gwneyd peth Crist peri fi? Fi caru cyd-weinidogion, er, fel y dywedais i wrthych y tro o'r blaen, nhw dim llawer caru fi; a fi gweddïo Duw bendithio nhw. A phan nhw dywedyd pethau drwg, a cheisio peri fi digio, fi meddwl pe Iesu Crist yn lle fi, fo dim gwaradwyddo yn ol, a dim ateb â geiriau drwg, a thymherau cas, ond fo dywedyd ychydig a gweddïo llawer. Ac felly, mi dywedyd dim yn ol, ond gweddïo Duw madden nhw."

Po fwyaf y siaradwn â'm disgybl du, mwy o foddlonrwydd oeddwn yn ei gael, fod ei feddwl ef wedi ei oleuo yn ysprydol, a bod ei galon wedi ei chyfnewid gan ras Duw.

Bum am gryn amser yn ymddiddan âg ef y tro hwn; canys fe ddywedodd wrthyf fod ei Feistr

edi myned oddi cartref am y diwrnod hwnw, a'i
d wedi rhoddi rhyddid iddo yntau am rai oriau.
mddiddenais âg ef lawer am y ddyledswydd a'r
hagorfraint o Fedydd: dangosais iddo allan o'r
lyfr Gweddi Gyffredin, egwyddorion ysgrythyr-
l ein Heglwys ni ar yr achos hwn; a chefais ef
n ewyllysgar i gydffurfio. Ac yr oedd yn ym-
dangos i mi yn addas i dderbyn gwystl sacra-
mentaidd allanol o gariad ein Hiachawdwr; a
lawenychais wrth feddwl am yr amser y cawn ei
styried, nid yn "ddieithr ac yn ddyfodiad, ond
n gyd-ddinasydd â'r saint, ac yn un o deulu
Duw."

"Addawodd Duw," ebe fi wrtho ef, "daenellu
[illegible]oedd lawer," nid yn unig â dwfr Bedydd,
ond hefyd â dyfal wlith ei fendith. Efe a ddy-
wedodd, 'Myfi a wnaf,' nid yn unig 'dywallt
dwfr ar y sychedig,' ond mi a 'dywalltaf fy Ys-
pryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth."

"Gall, Massa, efe a all fy ngwneuthur i yn lân
o galon, ac yn uniawn o ysbryd. Gall fo fy nglan-
hau fi âg isop, ac yna bod mi glân; ïe, gall fo
golchi fi, a finnau bod gwynach na eira."

"Yr Arglwydd a roddo i chwi y bendithion
hyn, ac a'ch cadarnhao ym mhob daioni."

Cefais lawer o hyfrydwch wrth weled a chlyw-
ed y modd serchog yr oedd yn llefaru am ei rïeni,
ac yn dymuno ar Dduw ryw fodd eu dwyn i ad-
nabyddiaeth o'r Iachawdwr.

"Pwy a wyr," ebe fi wrtho ef, "na bo rhyw
un o'r llongau acw yn trosglwyddo cenhadwr i'r
wlad lle maent hwy yn byw, i gyhoeddi y new-
yddion da o iachawdwriaeth i'ch cydwladwyr,

ac i'ch rhieni anwyl chwi, os ydynt hwy etto yn fyw."

"O! fy anwyl tad a mam; O! fy anwyl Ceidwad," eb efe, gan neidio oddiwrth y ddaear fel yr oedd yn dywedyd, "os gwnei ond achub eu heneidiau nhw, a dweyd wrth nhw pa bethau gwnaethost ti dros pechaduriaid—ond"—

Ar hyn tawodd—ei serchiadau a'i gorchfygasant.

"Yn awr, fy nghyfaill," ebe fi, "mi a weddiaf gyda chwi dros eich enaid chwi, a thros enaid eich tad a'ch mam."

"Da Massa, hyny pur da, a pur caredig; gwnewch gweddio dros eneidiau pobl duon yma, ac ym mhob man."

Tŷ gweddi newydd ydoedd hwn. Y traeth oedd y llawr; y nef oedd y tô; y creigiau serth a'r tònau ydoedd y muriau. Yn wir, nid mynych, yr wyf yn meddwl, y gweddïwyd yno; etto am unwaith, ni a weddïasom yno; a hir y bydd i mi gofio y tro. Yn ddiau yr oedd presennoldeb yr Arglwydd yno. Myfi yn gweddïo—a'r Negro yn wylo. Yr oedd ei galon yn llawn. Yr oeddwn yn cydymdeimlo âg ef, ac am hyny ni ellais ymattal rhag wylo gyd âg ef.

Y dydd mawr a ddengys pa un a oedd ein dagrau yn ddidwyll ai peidio.

Yr oedd hi erbyn hyn yn amser i mi fyned adref; a mi a bwysais ar fraich y Negro i ddringo i fynu y tapiau at fy ngheffyl, yr hwn a adawswn yn rhwym ar y gwastadedd; pwysais ar ei fraich ef, fel ar frawd, ac yr oeddwn yn falch o'r berthynas. Ac wrth ymadael, mi a ymeflais yn ei law

*ef*, ac a bennodais un cyfarfod rhyngom yn ychwaneg cyn ei fedyddio; a dywedais, Byddwch iach. Dywedodd yntau,

"Duw bendithio chwi, Massa anwyl."

"A chwithau," ebe finnau, "byth ac yn dragywydd."

---

## RHAN III.

Gelwais ryw dro ar ol hyn yn nhŷ Meistr y *Bachgen Du*, a chefais ganiatâd iddo ddyfod i'm cyfarfod i ryw dŷ yn y gymmydogaeth lle byddwn arferol o fyned. Yr oeddwn er's tro yn arfer cyfarfod âg ychydig ddynion crefyddol, ar brydnawn dydd Mercher, mewn tŷ yn agos i gartrefle y *Bachgen Du* i ymddiddan am bethau crefyddol, i adeiladu y naill y llall, ac i weddïo. A chan fy mod yn cael y rhai hyn yn fuddiol, meddyliais y gallai fod yn llesol i'r Negro fod yn bresennol ynddynt; ac hefyd meddyliais mai peth dymunol oedd iddo fod yno, fel y gallai ereill fod yn dystion o symlrwydd a phurdeb Cristionogrwydd, fel yr oedd yn ymddangos yn y dyn ieuangc hwn. Ac hefyd meddyliais y gallai fod yn foddion i ennyn a bywiogi yspryd gweddi a mawl ym mhlith rhai o'm plwyfolion.

Yr oedd y tŷ yr oeddym yn cyfarfod yn agos i bedair milltir o'r lle yr oeddwn yn byw ynddo. Ar y dydd a'r amser gosodedig, aethum tu a'r tŷ hwn; yr oedd y'nghanol coedwig o dderw; ac yn

yr haf yr oedd y derw hwn yn ei gysgodi ef. Fel yr oeddwn yn agosâu at y tŷ, canfum fy nghyfaill yn eistedd tan dderwen, i'm disgwyl; ac yr oedd yn ei law lyfryn bychan a roddaswn iddo; yr oedd ei Fibl ar lawr yn ei ymyl. Pan ddaethum ato, cyfododd yn llawen i'm cyfarch, a dywedodd,

"O, Massa, fi pur llawen gweled chwi; fi meddwl chwi yn hir iawn yn dyfod."

"Gobeithio eich bod chwi yn iach, William. Yr ydwyf yn myned i'ch cymmeryd chwi at ychydig o'm cyfeillion, y rhai, gobeithio, sydd mewn gwirionedd yn ymgais â phethau crefyddol. Yr ydym yn cyfarfod bob prydnawn dydd Mercher, i ymddiddan am y pethau sydd yn perthyn i'n tragywyddol heddwch; ac yr wyf yn sicr y bydd yn dda ganddynt eich gweled."

"Massa, fi ddim digon da i bod gyda fath pobl da; fi pechadur mawr; nhw Cristion da."

"Pe gofynech iddynt, William, dywedai pob un o honynt ei fod ef yn waeth nag ereill. Llawer o honynt a fu unwaith, a hyny dros hir amser, yn byw yn gyhoeddus mewn pechod, heb adnabod y Duw a'u gwnaeth; yn elynion i Grist Iesu mewn meddwl ac ymarweddiad. Ond attaliodd gras Duw hwynt yn eu gyrfa bechadurus, a darostyngodd eu calonau hwynt i'w garu ef, ac i ufuddhau i'w efengyl. Ni bydd i chwi gyfarfod ond cydbechaduriaid tlodion, y rhai sydd yn caru dywedyd a chanu am gariad Duw y'ngwaith y prynedigaeth. Ac y mae yn ddiddadl genyf, William, eich bod chwi yn ewyllysgar i ymuno â hwynt yn y gân hon."

"O, ydwyf yn wir, Syr, ac y mae y gân hon yn gwneyd y tro hynod i Negro tlawd."

Erbyn hyn yr oeddwn wrth ardd y tŷ. A phan y daethom at y tŷ, aml wynebpryd cydnabyddus i mi a'u croesawsant gyda gwên. Yr oedd yn hysbys iddynt fod y Negro i ddyfod yno y prydnawn hwnw, ac yr oedd boddlonrwydd yn ymddangos yn ngwynebpryd pob un fel yr oeddwn yn arwain y Negro i mewn, ac yn dywedyd, "Wel, yr wyf yn dwyn brawd o Affrica i ymweled â chwi y tro hwn, gyfeillion. Croesawch ef yn enw yr Arglwydd Iesu Grist."

"Syr," ebe un llafurwr tlawd, duwiol, a gostyngedig, calon a thafod yr hwn oedd yn wastad yn llawn o fwyneidd-dra Cristionogol, "y mae yn dda genym bob amser weled ein hanwyl weinidog, ond yn neillduol heddyw, o herwydd y cyfaill a ddygasoch gyda chwi. Clywsom am drugaredd yr Arglwydd tu ag ato ef." Ac yna, wedi troi at y Negro, efe a ddywedodd wrtho, "Rhoddwch eich llaw, gyfaill anwyl; yr Arglwydd a fyddo gyda chwi yma, ac ym mhob lle arall; a bendigedig fyddo ei enw sanctaidd ef am alw pechaduriaid, fel chwi a finnau, i'w garu a'i wasanaethu."

Cyfarchodd pob un ef fel yr oedd yn dyfod i mewn; a gwnaeth rhai hyny mewn modd hynod o serchog a charedig.

"Massa," ebe efe, "fi dim gwybod pa beth i dweyd wrth yr holl gyfeillion da hyn: fi meddwl hyn edrych fel nef bechan ar y ddaear."

Ac yna darfu iddo gyda llygaid llawn o ddagrau, yr hyn a dynodd ddagrau o lygaid pawb

ereill cyn iddo ddywedyd gair, dywedodd, "Cyfeillion da, a brodyr yn Crist Iesu, Duw bendithio chwi gyd, a dwyn chwi oll yn diwedd i nefoedd."

Ar ol hyn, yn ol fy arfer, darllenais ran o'r ysgrythyr, a gweddïais. Yna dywedais wrthynt fod rhagluniaeth wedi rhoddi y dyn ieuangc du yma dros ryw amser dan fy ngweinidogaeth i; ac yr wyf hefyd, wedi i mi gael boddlonrwydd ei fod o dueddiad difrifol, a chan gredu ei fod yn ddidwyll yn ei broffes grefyddol, yn meddwl ei fedyddio ef yn ol ei ddymuniad ei hun. Ac ychwanegais hefyd, gan ddywedyd, fy mod wedi ei ddwyn ef gyda mi i gyfranogi yn ein hymddiddanion crefyddol; canys fel yn y dyddiau gynt yr oedd y rhai a ofnent yr Arglwydd yn llefaru y naill wrth y llall, er tystiolaeth o'u myfyrdodau am dano, felly yr wyf yn gobeithio ein bod ninnau yn cyflawni dyledswydd Gristionogol a brawdol wrth ymgynnull fel hyn er adeiladu ein gilydd.

Yna troais at y Negro, a dywedais, "Pwy a'ch gwnaeth chwi, William?"

"Duw, y Tad da."

"Pwy a'ch prynodd chwi?"

"Iesu, ei anwyl Mab ef, yr hwn a fu farw drosof fi."

"Pwy sydd yn eich sancteiddio?"

"Yr Yspryd Glân, fo dysgu fi i 'nabod y Tad da, ac anwyl Mab fo, Iesu Crist."

"Pa beth oedd eich cyflwr chwi wrth natur?"

"Fi pechadur drwg, fi gwybod dim ond pechod, fi gwneyd dim ond pechod? enaid fi mwy du na corph fi."

"A fu dim cyfnewidiad ynoch chwi er hyny?"

"Mi gobeithio hyny, Massa, ond fi weithiau fui na de."

"Os cyfnewidiwyd chwi, pwy a'ch cyfnewidodd?"

"Duw, y Tad da, ac Iesu ei anwyl Mab ef, a Duw yr Yspryd Glân."

"Pa sut daeth y cyfnewidiad hwn ynoch?"

"Duw gwneyd fi caethwas pan fi bachgen pur bach."

"William, a ddywedwch chwi i Dduw eich gwneuthur chwi yn gaethwas."

"Na, Massa, na; fi meddwl Duw goddef i mi cael gwneyd caethwas gan ddynion gwyn, i gwneyd da i mi."

"Pa fodd i wneuthur da i chwi?"

"Fo dwyn fi o gwlad tywyll i gwlad goleuni."

"Pa wlad yr ydych yn ei galw yn wlad goleuni, yr India Orllewinol?"

"Na, Massa, nhw bod gwlad rhagluniaeth, ond America oedd gwlad goleuni i mi; canys yno fi clywed cynta gweinidog da yn pregethu. Ac yrwan, y lle hwn, lle bod fi yn awr, yw gwlad mwy goleuni; canys chwi dysgu fi mwy a mwy, mor da yw Iesu Crist i pechadur."

"Pa beth y mae gwaed Crist yn ei wneuthur?"

"Y mae yn glanhau oddiwrth bob pechod; ac felly fi gobeithio fo glanhau finnau hefyd oddi wrth bechod yn ei waed ef?"

"A ydyw pawb, ynte, wedi eu glanhau oddi wrth bechod yn ei waed ef?"

"O, na pawb, Massa."

"Pwy, ynte, a lanhawyd ac a achubwyd?"

"Rhai hyny sy credu ynddo ef."

"A ellwch chwi gadarnhau hyny o'r ysgrythyr?"

"Gallaf, Syr; 'Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol; a'r hwn nid yw yn credu i'r Mab, ni wel fywyd, ond y mae digofaint Duw yn aros arno ef.' *Ioan* 3. 36.

"Beth yw credu ynddo ef, neu bod â ffydd ynddo ef?"

"Fi meddwl mai meddwl llawer am Iesu Crist, a caru fo llawer, a credu bod yn gwir pob peth fo dywedyd, a gweddïo fo mynych mynych; a phan fi profi fy hun pur gwan a pur pechadurus, fi meddwl bod Iesu pur cadarn a pur da, a hyny er mwyn fi, yw credu ynddo, neu bod a ffydd ynddo."

"A oes genych chwi y fath ffydd a hon?"

"Massa, fi meddwl weithiau bod dim ffydd gan fi."

"Pa'm felly, William?"

"O achos, pan fi eisieu meddwl am Iesu Crist, meddwl fi crwydro o amgylch ar ol pethau eraill; pan fi eisieu caru fo, calon fi fel telpyn ia; pan fi chwennych credu bod gwir pob peth fo dweyd wrth pechaduriaid, yna mi meddwl hyny dim gwir i mi; pan fi ceisio gweddïo, y cythraul rhoi meddyliau drwg, drwg iawn, yn calon fi; ac ni all fi un amser diolch fo digon. Yrwan, mae hyn weithiau yn peri mi meddwl ac ofni nad oes dim ffydd gan fi."

Pan yr oedd yn llefaru fel hyn, sylwais ar astudrwydd a chyd-ymdeimlad amryw o'r gwrandawyr; ac yna dywedais,

"William, yr wyf yn meddwl y gallaf ddangos fod genych chwi ffydd, er eich holl ofn ar yr achos

hyn. Atebwch i mi ychydig ychwaneg o ymofyniadau.

"A ddechreuasoch chwi ystyried eich hun yn bechadur, a gweled eisieu Iachawdwr, o honoch eich hun?"

"O, na, hyn dwad i mi pan fi meddwl dim am hyny, a phan fi dim yn ymgais ar ol hyny."

"Pwy a ddanfonodd y gweinidog da yn yr America i ddeffroi eich enaid chwi o gwsg pechod, trwy ei bregethiad?"

"Duw, yn ddigon sicr."

"Pwy hefyd a sobrodd eich meddyliau chwi?"

"Y Duw da; fi dim gallu gwneuthur hyny o honof fy hun, fi sicr hyny."

"Ai nid ydych yn ystyried Iesu Grist a'i iachawdwriaeth yr un peth mwyaf angenrheidiol a dymunol?"

"O! ydwyf yn sicr."

"Onid y'ch yn credu ei fod yn alluog i'ch achub?"

"Ydwyf, y mae efe yn alluog i achub hyd yr eithaf."

"Ydych chwi yn meddwl nad yw efe yn ewyllysgar i'ch achub chwi?"

"Fi ddim meiddio dweyd hyny; fo mor da, mor trugarog, mor tirion; fo hefyd dweyd yr hwn a dêl nis bwriaf ef allan dim."

"Ydych chwi yn dymuno, yn hiraethu, ac yn ymdrechu cadw ei orchymynion ef?"

"Ydwyf, Massa, am bod fi yn caru ef, a hyn peri i mi ceisio gwneuthur fel fo dweyd."

"Ydych chwi yn foddlon i ddioddef erddo ef, pe galwai Duw chwi i hyny?"

"Fi yn meddwl y gallwn farw o gariad ato ef: fo dim gweled yn ormod i marw tros pechaduriaid drwg; pa'm dylai pechaduriaid drwg feddwl o'n peth mawr dioddef dros Iachawdwr mor da ac mor cyfiawn?"

"Yr wyf yn meddwl ac yn hyderu y gallaf ddywedyd wrthych chwi, William, dy ffydd a'th iachâodd."

Ac fel hyn terfynodd ein hymddiddan y tro hwn. Yr oedd y cyfeillion ereill yn gwrando yn y modd mwyaf astud ar y pethau a lefarid: ac un o honynt a sylwodd gyda gwresogrwydd,

"Yr wyf yn gweled yn eglur, Syr, er fod rhai dynion yn wynion, a rhai yn dduon, mai yr un yw gwir Gristionogrwydd. Yr oedd fy nghalon i yn cydfyned â phob gair a ddywedodd yr un du yma."

"Ac felly yr oedd fy un innau," ebe pob un yn y tŷ.

Ar ol llawer o ymddiddan cyffredin arall am helyntoedd y Negro, mi a ddywedais, "Gadewch i ni oll gyduno i foli Duw am ei ddawn annhraethol, gan ganu yr hymn am gariad prynedigol—

Caned holl drigolion llawr,
Gân hyd entrych nef yn awr, &c.

a hyn a wnaed. Ac os na ellir dywedyd llawer am bereidd-dra eu lleisiau naturiol, yr oedd yn hawdd deall fod peroriaeth yn eu calonau.

Nid oedd y Negro yn gynnefin â'n ffordd ni o ganu, etto fe ymunodd gyd â'r fath awyddfryd serchog, ag oedd yn dangos ei fod yn teimlo yr

hyn oeddym yn ei ganu. A phan orphenwyd y bummed linell,

Dim ond cariad Iesu mawr,
A'i dygodd ef o'r nef i lawr,

efe a ddyblodd y geiriau hyn, fel pe buasai heb wybod iddo ei hun, gan sylwi,

"Na, dim ond cariad, dim ond cariad anfeidrol a'i dygodd ef o'r nef i lawr, at William dlawd, dim ond cariad anfeidrol."

Diweddais gyda rhai sylwadau ar natur yr iechydwriaeth rad, gan annog pawb presennol i fyned yn y blaen ar hyd ffordd y bywyd.

Yna pennodais y diwrnod i fedyddio y Negro; ac yna cenais yn iach i'm teulu bychan.

Ym mhen ychydig o ddyddiau, y Negro a fedyddiwyd; ac yn fuan ar ol hyny, aeth allan gyd â'i Feistr i fordaith: ac er hyny hyd heddyw, ni ellais gael dim hanes am dano. Pa un a ydyw efe etto yma gyda ni, yn ymdaith yn yr anialwch, neu, ynte, a ydyw efe wedi ymuno â'r côr gogoneddus fry, nis gwn. Hyn a wn; yr oedd yn gof-arwydd o rad ras. Delw y Gwaredwr oedd i'w chanfod yn eglur arno, ac arwyddion o ras tröedigol oedd yn amlwg iawn yn ei ymarweddiad tra syml a didwyll.

## I Dduw y Bo'r Clod.

Fel effaith o fy mynych ymweliadau â'r Bachgen Du hwn, cyfansoddais y llinellau canlynol, y rhai a enwais

## GWEDDI Y NEGRO.

ARGLWYDD Iesu, O! mor ryfedd
Yw Dy gariad a'th drugaredd!
Negro gwael sy 'n galw arnat,
Deued llef ei weddi attat.

Cym'raist arnat ein gwendidau,
Dygaist fy noluriau innau;
Hyn sy 'n peri im' obeithio
Na ddirmygi weddi 'r Negro.

Hir y bûm yn byw, ysywaeth,
'N adyn gwael mewn anwybodaeth;
" Ymddangosodd gras yn helaeth,
" Dygodd imi iachawdwriaeth."

Mi fûm gynt yn gaethwas truan,
Caeth i bechod, caeth i Satan,
Caeth i ddynion caled galon,
Prynent, gwerthent Negroes duon.

Caru 'r wyt y Negroes duon
Gymmaint oll a dynion gwynion;
Du na gwyn ni wna wahaniaeth
Yn dy gariad, na rhagoriaeth.

O! bai 'nhad a mam yn clywed
Faint dy ras i bechaduriaid,
Faint ddioddefaist drostynt hwythau,
Faint a wneist i'm henaid innau.

Anfon dy Efengyl, anfon,
I oleuo 'r Negroes duon;
Dysg y ffordd i'r nef i Negro,
Dy Air, dy ras, O dyro iddo.

P'le mae Duw fel Duw y Cristion,
'N achub Affricaniaid duon?
Pwy sydd fel Efe 'n tosturio,
Ac yn gwrando gweddi Negro?

Dy waed dywelltaist dros fyrddiynau
O gre'duriaid gwael fel finnau:
Llawer sy 'n dirmygu Negro,
Iesu er hyn sy 'n gwrando arno.

Dyma swm fy holl ddymuniad,
Rhodio 'n wastad yn dy gariad,
Cael fy ngwared rhag anwiredd,
Byw a marw i'th anrhydedd.

Os, ar ol fy mhererindod,
Caf fy nwyn i'r nefoedd uchod,
Traethaf byth i bawb sydd yno,
Ti wrandewaist weddi Negro.

## HYMN FOREUOL.

Fy enaid deffro, cân yn awr,
Fel adar achub blaen y wawr:
Os mawl sy'n perthyn iddynt hwy,
Mae mawl i mi mil miloedd mwy.

Fy nyled fawr feunyddiol yw
Talu ufuddaf glod i'm Duw;
Yn byw 'n y byd tra byddaf fi,
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

Fy Mhrynwr yw, mae 'n haeddu cael,
Y blaen-ffrwyth o'm gwasanaeth gwael:
Am drugareddau mawr heb ri',
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

Beth os yw poen a chroesau 'r byd,
Fel tòn ar dòn yn curo o hyd,
Er maint fy nghroes, fy mhoen a nghri,
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

## HYMN BRYDNHAWNOL.

I Ti, fy Nuw, rhof foliant rhydd,
Am freintiau dwys oleuni 'r dydd:
Gwna i mi noddfa gadarn gu,
Dan gysgod Dy adenydd Di.

**Er mwyn Dy anwyl Fab Dy hun,
O maddeu 'meiau mawr bob un;
Fel cyn yr hunwyf 'bwyf o hyd
Mewn hedd â Thi, fy hun a'r byd.**

**Dysg i mi fyw, a myn'd mewn hedd,
Fel 'rwyf i'm gwely felly i'm bedd:
Dysg i mi farw, a bod heb fraw,
Pan ddelo Crist ar gwmmwl draw.**

**Gwna i mi orphwys heno o hyd
Yn dawel dan Dy aden glyd;
A d'od yn wiw ar doriad wawr,
I foli 'n fwy fy Arglwydd mawr.**

**I Dad y trugareddau 'gyd,
Rhown foliant holl drigolion byd:
Llu 'r nef moliennwch Ef ar gân,
Y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan.**



**Bala: R. Saunderson, Argraphydd.**

# LLYFRAU
## I
# YSGOLION CYMREIG,

*Ar werth gan R. Saunderson.*

---

HANES MERCH Y LLAETHWR, pris 6ch. neu 4 swllt y dwsin.

HANES JANE FACH, pris 4c. neu 3s. y dwsin.

Y TLWS ARIAN, pris 4c. neu 3s. y dwsin.

HANES Y BACHGEN DU, pris 2g. neu 1s. 6ch. y dwsin.

ESPONIAD BYR AR GATECISM YR EGLWYS, pris 2g. neu 1s. 6ch. y dwsin.

EGWYDDORIG O'R IAITH GYMREIG, neu y Llyfr Cyntaf i ddechreu dysgu darllen, RHAN I. pris 2g. neu 1s. 6ch. y dwsin.

EGWYDDORIG, RHAN II. pris 3c. neu 2 swllt y dwsin.

LLYFR Y DOSPARTH CYNTAF, at Ddarllen, Sillebu, ac Egwyddori, pris 8 swllt y cant.

LLYFR YR AIL DDOSPARTH, pris 8 swllt y cant.

LLYFR Y TRYDYDD DOSPARTH, pris 12s. y cant.

HOLIADAU ar Lyfr y Dosparth Cyntaf, pris 2g. neu 1s. 6ch. y dwsin. Hefyd ar yr Ail Ddosparth, pris 3c. neu 2s. y dwsin. Hefyd ar y Trydydd Dosparth, 4c. neu 3s. y dwsin.

